# AWEN CYMRU.

*A'th rodd yw athrwydd Awen.*——EDM. PRYS.

## PENNILLION.

XVII.

GWYN eu bŷd yr adar gwylltion,
Hwy gânt fyn'd i'r fan y fynon';
Weithiau i'r môr, a weithiau i'r mynydd,
A dawod adref yn ddigerydd.

XVIII.

Trwm y plwm, a thrwm y cerig,
Trom yw calon pob dyn unig,
Trymaf peth tan haul a lleuad,
Canu'n iach, lle byddo cariad.

XIX.

Yn hên, ac yn ieuanc, yn gall, ac yn ffol,
Y merched sy'n gwra, a minnau ar yr ol;
Pa'm y mae'r meibion i'm gweled mor wael,
A minnau gan laned a merched sy'n cael?

XX.

Blodau 'r flwyddyn yw f' anwylyd,
Ebrill, Mai, Myhefin hefyd;
Llewyrch haul yn tywynu ar gysgod,
A gwenithen y genethod.

XXI.

Da gan adar mân y coedydd;
Da gan ŵyn feillionog ddolydd:
Da gan i brydyddu 'r hafddydd
Yn y llwyn, a bôd yn llonydd.

XXII.

Hawddfyd i ddydd yr Awen,
Pan oeddwn gynt yn fachgen,
A chyda 'r gôg yn canu'n fwyn,
Yn nghyfor llwyn yn llawen.

A TRANSLATION of the ODE on the DEATH of SIR THOMAS PICTON, which follows in page 111.

Gerddorion mwynion a mad,—o tynnwch
O 'ch tannau alarnad;
Forwynion cenwch farwnad,
Eirian glain arwr ein gwlad. S. PRICE.